# BEDYDD.

Llawer o frwydrau ar feusydd papyr a thafod sydd wedi eu hymladd ynghylch bedydd, a hyny hefyd gan ddynion wedi eu hanfon, meddynt hwy, i weinyddu yr ordinhad. Y mae yn beth syn iawn i feddwl dyn ystyriol, i weled cynnifer o genadon dros Dduw yn gweinyddu yr ordinhad o fedydd, yr hon sydd o'i osodiad ef ei hun, ac i gyd yn anghytuno yn ei chylch. A ddichon fod pregethwr wedi ei anfon gan Dduw i fedyddio, os na fydd yn gwybod yn ddiamheuol pa fodd y mae bedyddio, a phwy i fedyddio? Y mae yn anmhosibl, debygwn i. Yr oedd dyscyblion Crist, yn yr oes apostolaidd, yn gwybod yn eithaf da ynghylch bedydd; ac o ganlyniad, nid yw yr hanesion yn y Testament Newydd am fedyddio yn egluro nemawr ar y gweinyddiad, ond yr hyn a grybwyllir yn anfwriadol. Hyn yw yr oll a ystyria y gwahanol enwadau yn angheurheidiol er gweinyddu, yn lle iawn hyfforddiad oddiwrth Dduw, neu trwy olyniad oddiwrth y rhai a wyddent. Gan nad yw yr haneswyr ysgrythyrol wedi amcanu dangos pa fodd i weinyddu bedydd, na desgrifio y pethau sydd yn perthyn iddo, ond yr hyn a amlygent yn ddamweiniol,—y mae yn amlwg, ynte, nad oeddynt hwy yn golygu y buasai neb yn cymmeryd yr hyn a fuasent hwy yn ysgrifenu, *yn unig*, yn ddigonol er derbyn iawn hyfforddiad i weinddu yr ordinhad, ond y buasent yn derbyn y cyfarwyddyd a roddwyd gan Grist yn draddodiadol. Y mae yn rhesymol i gredu fod Crist wedi desgrifio yr ordinhad i'w apostolion yn fanwl; canys nid oes hanes fod unrhyw gamddeall yn ei chylch yn yr holl Destament; ond, etto nid yw y desgrifiad hwnw mewn ysgrifen, ac o ganlyniad ni allwn ni yn yr oes hon gael cyfarwyddyd ond oddiwrth Dduw yn uniongyrchol, neu trwy draddodiad, oddieithr yr hyn a gasglwn oddiwrth haneswyr ysgrythyrol pan yn crybwyll yn ddamweiniol am ryw bethau perthynol i fedydd.

Wedi sylwi yn y modd yna, y mae yn ymddangos bellach yn anhygoel fod neb enwad o grefyddwyr yn ymwneyd â bedydd yn iawn, ac fel y gosodwyd ef gan Grist. Ond rhag collfarnu neb yn fwriadol, gwnawn ymchwiliad teg i'r crybwylliadau damweiniol sydd am fedydd yn y Testament Newydd; ac os cawn rhyw sect

yn cyfateb yn ei gweinyddiad o fedydd i'r hyn a allwn gasglu o'r Testament Newydd, bydd yn eithaf tebyg fod y sect hono wedi ei hyfforddi gan Dduw yn uniongyrchol, neu trwy draddodiad; neu, o leiaf, ymddengys fel y fwyaf cywir o'r lleill. Cawn olrhain, ynte, i Fedydd fel hyn:—

I. Pa beth yw prif ddyben Bedydd?

Dyma ofyniad a atebir mewn amryw ffyrdd. Dywed rhai mai dangosiad ydyw o fod y bedyddiedig yn gwneyd proffes o'r efengyl. Ereill a ddywedant mai arwydd ydyw fod digon ar ei gyfer yn Nuw. Rhai a haerant mai arwydd allanol ydyw o fedydd yr Ysbryd Glân, ac ereill mai sel ydyw, fel yr enwaediad gynt. Ond pa beth a ddywed yr ysgrythyr am dano? Wel, dywed fod Ioan yn bedyddio "er maddeuant pechodau" (gwel Marc i, 4; Luc iii, 3). Dywed Pedr ar dydd y Pentecost, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, *er maddeuant pechodau*" (Act. ii, 38). Mae yr hyn a ddywedir gan Ananias wrth Paul, sef, "Cyfod, bedyddier di, a golch ymaith dy bechodau," yn dangos fod maddeuant yn dyfod trwy fedydd. Yr oedd Ioan Fedyddiwr, yn annog ei wrandawwyr i ddwyn "ffrwythau addas i edifeirwch," a'u bod hwythau yn "cyffesu eu pechodau" pan yn cael eu bedyddio, yn dangos yn amlwg mai yn y bedydd yr oedd cael maddeuant pechodau. Felly y gellir sylwi gyda golwg ar Pedr ar dydd y Pentecost, pan yn dweyd wrth y dyrfa am edifarhau yn flaenorol i fedyddio. Mae yn naturiol iawn wrth hyn oll i benderfynu fod bedydd *er maddeuant pechodau*.

II. Pwy yw Deiliaid Bedydd?

Yr anghytundeb mwyaf ynghylch y pwnc hwn yw, pa un a ydyw babanod yn ddeiliaid cymhwys ai peidio. Dywed pawb fod credinwyr yn gymhwys. Ond nad beth a ddywedo neb, os yw bedydd er maddeuant pechodau yn ysgrythyrol, y mae yn cau babanod allan, am nad ydynt wedi pechu; a dynion yn credu, ac yn edifarhau, yw yr unig ddeiliaid. Eithr rhag fod rhywun yn tybied fod sail i fedyddio babanod, ceir chwilio i mewn i'r hyn a ddygir yn mlaen fel prawf o hyny. Dywedir fod gorchymyn Crist i ddysgu "yr *holl genedloedd*, gan eu bedyddio, &c.," yn cynnwys fod pob un yn yr holl genedloedd yn ddeiliaid bedydd; a dywedir fod y geiriau "holl genedloedd" i'w deall yn y commissiwn, yr un fath ag yn Math. xxv, 32—"A chydgesglir ger ei fron ef *yr holl genedloedd*." Nid oes dim neillduol yn fwy yn y

geiriau "yr holl genedloedd," nâ'u bod yn golygu *pob cenedl.* Pe gorchymynid i ni rifo yr holl genedloedd, gallem ufyddhau i'r gorchymyn heb rifo pob un yn yr holl genedloedd; ond pe gorchymynid i ni ladd yr holl genedloedd, nis gallem gyflawni hyny heb ladd pob un yn yr holl genedloedd. Pe ewyllysiem argyhoeddi yr holl genedloedd, nid gwiw fuasai i ni dreio argyhoeddi babanod, er y buasai yr ymadrodd yn eithaf grammadegol; ond pe ewyllysiem foddi yr holl genedloedd, buasai raid i ni foddi y babanod a phawb. Y mae yn amlwg, gan hyny, fod ystyr "yr holl genedloedd" yn ymddibynu yn gwbl ar yr hyn sydd yn cael ei gysylltu wrtho. Yn yr un modd y mae deall "Pregethwch yr efengyl i *bob creadur*" hefyd. Ond efallai fod rhywun am wrthod y rhesymau blaenorol, ac yn penderfynu fod rhaid cymmeryd yr holl genedloedd yn y commissiwn yn yr un ystyr â'r holl genedloedd yn Math. xxv, 32—"A chydgesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd." Cymmered amddiffynwr babanod ychydig bwyll, a chawn weled pa un a ydyw yr ymadroddion diweddaf yn cynnwys yr *holl genedloedd*, yn yr ystyr helaethaf—ïe, pa un a ydynt yn cynnwys babanod neu beidio. Yr ydym yn darllen yn Math. xxiv, 31, fod yr holl etholedigion yn cael eu casglu yn flaenorol i gasgliad yr holl genedloedd, a chan fod babanod yn ddeiliaid teyrnas nefoedd, y mae yn amlwg eu bod i gael eu casglu gyda'r etholedigion. Ond nad beth am hyny, gallwn brofi na fydd *babanod* yn nghasgliad yr holl genedloedd; a hyny fel hyn:—Y mae Crist yn dweyd wrth y rhai ar ei ddeheulaw, "Deuwch chwi, fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi, er seiliad y byd; canys bum newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd, &c.;" a dywed wrth y rhai ar ei law aswy, "Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragwyddol, &c.; canys bum newynog, ac ni roisoch i mi fwyd, &c." Darllener yr adnodau oll. Heblaw y da a'r drwg sydd yn cyfansoddi yr holl genedloedd, y mae Crist yn siarad am blaid arall, yr hon, mae yn debyg, yw yr etholedigion a fuasent wedi eu casglu yn flaenorol; canys dywed am danynt, "Yn gymmaint â'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf." Y mae rhan o'r holl genedloedd yn cael eu gwobrwyo yn ddiddysgwyliad am eu gweithredoedd da; a'r rhan arall yn cael eu condemnio am eu gweithredoedd drwg. Nid yw babanod yn gwneyd da na drwg; ac y mae yn amlwg, o ganlyniad, *na fydd babanod yn "yr holl genedloed" hyn.* Cawn yn nesaf edrych i'r commissiwn er gweled gorchymyn i wneyd pa

beth i'r holl genedloedd sydd yn cael ei feddwl. Dywedir yn Mathew xxviii, 19—"Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio;" ac yn Marc xvi, 15—"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig." Yn y cyntaf, gorchymyn i *ddysgu*, neu wneyd dyscyblion o'r holl genedloedd sydd, gan eu bedyddio; ac yn yr ail, gorchymyn i bregethu yr efengyl sydd, a'r sawl a gredai ac a fedyddid a fyddai cadwedig. Mae yn amlwg mai dysgu neu bregethu yr efengyl sydd mewn golwg yn y ddau le; ac mai rhai yn derbyn neu yn credu yr hyn a ddysgid neu a bregethid, oedd deiliaid i bedyddio. Nid oedd y rhai ni chredent yn ddeiliaid bedydd, ond condemniad; ac y mae hyn yn dangos nad yw yr holl genedloedd, yn ol yr ystyr a roddir i'r geiriau gan rai i gael eu bedyddio. Yn y geiryddiad cyntaf o'r commissiwn, gorchymynir "dysgu iddynt bob peth" a orchymynodd efe i'w apostolion, yn ychwanegol at yr hyn a ddysgid iddynt yn flaenorol. Mae yn eglur wrth y dysgu cyntaf mai dysgu egwyddorion blaenaf Cristionogaeth a feddylid, megys y gwnai Pedr ar ddydd y Pentecost, sef, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch er, maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." Gwelir fod Pedr yn dweyd, "Bedyddier *pob un* o honoch;" ond "y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd" yn unig. Wrth y dysgu diweddaf yn y commissiwn, sef y "dysgu pob peth," y deallir y dysgu hyny a wnelai yr apostolion ac ereill ar y credinwyr yn eu llythyrau a'u hymweliadau atynt. Nid yw y dysgu cyntaf yn gweddu i rai sydd wedi dod yn ddyscyblion, ond yr ail ddysgu; ac nid yw y dysgu olaf yn gweddu i'r rhai sydd heb gredu, ond y cyntaf. Dysgu y cyntaf neu yr olaf i faban sydd ffolineb, canys y mae gwaith mawr i'w ddysgu ef i gerdded a siarad o flaen hyny; ac o ganlyniad, y mae yn unol â'r commissiwn i beidio bebyddio baban nes y byddo wedi dysgu y dysgu cyntaf canys pe bedyddid ef cyn hyny, newidid y commissiwn yn "Bedyddiwch, gan ddysgu wedi hyny," am y bedyddir babanod yn awr yn fuan wedi eu geni. Y mae yn beth a addefa pawb, ond odid, fod pob creadur rhesymol yn ddeiliad pregethu, ac os creda yr hyn a bregethir (ond nid heb hyny), yn ddeiliad bedydd hefyd; ac o ganlyniad, fe welir wrth hyn y gall rhywun fod yn ddeiliad pregethu, pan na fydd yn ddeliad bedydd, trwy ei fod yn parhau yn anghredadyn. Ond gadawn y commissiwn i fyned at esiampalu o fedyddio, er cael gweled a oeddid yn bed-

yddio babanod yn rhywle. Dichon fod rhywun yn barod i waeddi fod teulu ceidwad y carchar wedi eu bedyddio oll, a bod teulu yn cynnwys babanod. Yr hyn sydd yn cael ei ddweyd yn yr hanes hyny yw hyn.—"A hwy a draethasant iddo air yr Arglwydd, ac i *bawb* oedd yn ei dŷ ef;" a dywedir hefyd am danynt, "Ac efe a fu lawen, gan *gredu* i Dduw, efe a'i *holl* deulu." Yn awr, os oedd yno fabanod, yr oeddid yn pregethu iddynt, ac yr oeddynt hwythau yn credu. Y mae yn rhesymol, gan hyny, i feddwl nad oedd babanod yno. Beth sydd i ddywedyd am deulu Lydia, ynte? Nemawr o ddim. Mae yn amlwg i'w theulu gael eu bedyddio; ond yr holl eglurhad a ellir gael yw yr hyn sydd yn Act. xvi, 40—"Ac wedi myned [o'r apostolion] allan o'r carchar, hwy a aethant i mewn at Lydia; ac wedi gweled y *brodyr*, hwy a'u *cysurasant*, ac a ymadawsant." Y mae yn amlwg, debygwn i, mai y *brodyr* oedd teulu Lydia, a'u bod yn cymmeryd eu cysuro; o leiaf, nid oes awgrym fod ganddi fabanod, ac y mae yn bosibl cyfansoddi teulu hebddynt hwy. Etto, dywedir am Crispus a'i deulu—"A Chrispus yr arch synagogydd a *gredodd* yn yr Arglwydd, a'i *holl dy*" (Act. xviii, 8). Babanod oedd y rhai hyn etto yn alluog i gredu. Efallai, ynte, fod babanod yn mysg yr holl rai a fedyddiodd Ioan yn yr Iorddonen; ond ymddengys fod bedydd Ioan yn hollol anaddas i fabanod. Dywed Paul am fedydd Ioan fel hyn—"Ioan yn ddiau a fedyddiodd â bedydd *edifeirwch* gan ddywedyd wrth y bobl am *gredu* yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yn Nghrist Iesu" (Act. xix, 4). Ychwanegir at "fedydd edifeirwch" y geiriau *er maddeuant pechodau* yn Marc i, 4. Ond, meddai y bedyddiwr babanod, os yw yr holl enghreifftiau blaenorol yn anffafriol i'n deiliaid bychain ni, y mae yr hyn a ddywedodd Crist yn ddigonol yn ngwyneb y cyfan a ddangoswyd yn eu herbyn. Y mae Crist yn dweyd am blant, "Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch iddynt: canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd" (Marc x, 14; Math. xix, 14). Yn awr dadleuir, os darfu i Grist ddweyd fod babanod yn ddeiliaid teyrnas nefoedd, paham, yn enw rheswm, gan eu bod mor dda, nad ydynt yn deilwng i gael eu bedyddio, a dyfod trwy y drws bedydd i'r eglwys? Wel, y maent yn deilwng i fyned i'r nef, os hunant yn fabanod, am i Grist eu prynu; ond nid oedd Crist, er hyny, yn gweled y rhai hyny yn wrthddrychau addas i gael eu bedyddio o herwydd nad oeddynt wedi pechu. Y mae yr hanes yn dangos i ni iddynt gael eu bendithio, ond nid eu bed-

yddio. Efallai iddynt gael eu bedyddio cyn hyny rywbryd,—pa fodd y gwyddom ni lai? Wel, ni thâl i ni ddychymmygu yn eu cylch, pa un a gawsant eu bedyddio neu beidio; ond gallwn ymresymu, ac os dal rheswm ei dir, yr ydym o'r farn y try yr amgylchiad hwn yn waeth yn erbyn bedyddwyr babanod nâ dim sydd wedi ei grybwyll hyd yn hyn (oddieithr y bedyddio "er maddeuant"), ac y profa yn amlwg na fedyddiodd Crist a'i ddyscyblion fabanod erioed, o leiaf, gallwn ddweyd, yn flaenorol i'r amser y bendithiodd Crist y plant bychain dan sylw. Y modd y profir hyn sydd fel y canlyn:—Yr ydym yn cael fod yr Iesu a'i ddyscyblion yn arfer bedyddio ar yr un amser ag oedd Ioan yn gwneyd hyny (gwel Ioan iii, 22, 26; iv, 1, 2); ac y mae yn rhesymol i farnu iddynt ddechreu bedyddio mor foreu ag y darfu iddynt bregethu, a chael gan rai i gredu. Yn awr, os oedd yr apostolion yn arfer bedyddio babanod, neu wedi gweled Ioan Fedyddiwr yn gwneyd hyny, paham yr oeddynt am rwystro plant bychain i ddyfod at Grist? Os meddylir eu bod wedi eu bedyddio yn flaenorol, ac mai dyfod yr oeddynt yn awr i gael eu bendithio, yna y mae yn afresymol i dybied y buasent am rwystro rhai wedi dyfod yn frodyr iddynt, trwy eu bod wedi eu bedyddio i'r un bedydd. Gwelir wrth hyn mai eu bendithio yn unig a wnaeth Crist; ac os yw amddiffynwyr neu wrthwynebwyr bedydd babanod yn gwneyd rhywbeth iddynt heblaw eu bendithio, cyflawnant yr hyn na roddodd ein Harglwydd un esiampl yn ei gylch. Bellach, gwelir yn eglur mai y cyfryw ag sydd yn credu tystiolaeth gweision Duw, ac yn edifarhau am eu pechodau, yw unig ddeiliaid yr ordinhad o fedydd.

III. Pa fodd y mae gweinyddu Bedydd?

Er ymchwilio pa un ai trochi neu daenellu yw y dull iawn o weinyddu yr ordinhad, cymmerwn yr un llwybr ag a gymmerwyd yn y ddau bwnc blaenorol. Heb fyned i roddi barn dysgedigion am baptizo, cawn edrych i mewn i'r hyn sy'n gyssylltiedig â'r gair *bedyddio* yn y Testament Newydd Cymreig, a gadawn yr holl Roeg i'r rhai sydd "yn dysgu bob amser." Y peth cyntaf a deilynga ein sylw yw bedydd Ioan; ac y mae yn amlwg mai hwn yw y goreu i roddi goleuni ar ein pwnc. Yn Math. iii, 1, dywedir—"Daeth Ioan Fedyddiwr, gan bregethu yn niffeithwch Judea," ac, yn ol efengylwr arall, yn "mhob goror ynghylch yr Iorddonen," yr hyn sydd yn dangos nad oedd efe wrth bregethu yn cyfyngu ei hun i'r un lle, er fod y cyfan yn y "diffaethwch."

"Yna yr aeth allan ato ef Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen: a hwy a fedyddiwyd ganddo ef *yn yr Iorddonen*" (adn. 5, 6). Etto, "A bu yn y dyddiau hyny ddyfod o'r Iesu o Nazareth yn Galilea, ac efe a fedyddiwyd gan Ioan *yn yr Iorddonen;* ac yn ebrwydd wrth *ddyfod i fyny o'r dwfr*, efe a weloedd y nefoedd yn agored, a'r Ysbryd yn disgyn arno megys colomen" (Marc i. 9, 10). Pe buasai yr ymadroddion blaenorol yn newydd i'r darllenydd, a'i fod yntau yn gwybod mai trochi neu daenellu oedd yn cael ei wneyd, pa un o'r ddau a dybiai efe yn fwyaf cydweddol â'r desgrifiad? Caiff ateb drosto ei hun. Mae rhai am wneyd "*yn* yr Iorddonen" i feddwl defnyddiad o ddwfr yr Iorddonen, a'r lleill i feddwl dim mwy nâ glàn yr Iorddonen. Myn rhai hefyd wneyd i "ddyfod i fyny *o'r* dwfr," i feddwl *oddiwrth* y dwfr. Mae yr Iorddonen, gan y rhai sydd yn dadleu fel yna, yn cael ei gwneyd yn rhewllyd iawn, ac o ddyfnder yn ei glanau holloi anghyfleus i drochi; ac y mae pob peth sydd yn fanteisiol er bedyddio trwy drochi, o angheurhaid yn mhell oddiwrthi. Mae rhai, o herwydd y dywedir fod Ioan yn bedyddio yn Bethabara, y *tu hwnt* i'r Iorddonen, ac i'r Iesu *aros* yn y man hyny (Ioan i, 28; x, 40), yn ceisio profi mai nid *yn* yr Iorddonen yr oedd efe yn bedyddio, ond y *tu hwnt* iddi; ac o ganlyniad, mai defnyddiad o ddwfr yr Iorddonen yn Bethabara sydd i'w olygu wrth yr "*yn* yr Iorddonen." Wel, pa beth a ellir ddweyd dros mai trochi, ac nid taenellu, yr oedd Ioan? Dywedwn mai *yn* yr Iorddonen y bedyddiai, nid am na allai y gair *yn* weithiau feddwl làn neu ymyl yr afon, neu "lanhau y tŷ *yn* ngwaed yr aderyn, ond am ei fod yn beth *an*hygoel fod Ioan yn dyfod at ymyl yr afon i daenllu, ac yn beth hygoel fod Ioan yn myned i'r afon i drochi. Yr oedd gwell lle yn agos i dai yn rhywle, fel y gallai gael llestri dwfr yn gyfleus, nâ myned â'r bobl tua glànan rhewllyd (?) yr Iorddonen, i oeri heb un achos, ac i ddyoddef, os oedd yn rhewi, ergydion dyferynau rhewllyd oddiwrth y taenellwr! Os nad oedd Ioan yn myned â'i fedyddiedigion i lawr at fin y dwfr, y mae yn anmhriodol dywedyd "dyfod i fyny *oddiwrth* y dwfr," chwaithach *o'r* dwfr; canys os mai mewn rhyw bellder oddiwrth yr afon yr oedd yn bedyddio, er yn defnyddio dwfr o honi hi, buasai yn llawer mwy priodol i eirio—"Dyfod i fyny oddiwrth Ioan," ond nid heb ystyried er hyny fod Ioan mewn pant, oblegid y "dyfod *i fyny.*" Mae yn dygwydd yn chwithig iawn i'r rhai a farnant mai yn Bethabara yr oeddid yn bedyddio,

ac mai defnyddiad o'r afon gan Ioan i fedyddio yno, oedd i'w feddwl wrth "*yn* yr Iorddonen—ïe, mae yn dygwydd yn chwithig iddynt, meddaf, i'r Iesu "ddyfod yn ebrwydd *i fyny o'r dwfr*!" Y mae y crybwylliad blaenorol am Bethabara yn peri i mi ymofyn pa beth ydyw ystyr yr enw; ond heb achos trafferthu ynghylch hyny yn awr, yr wyf yn cofio i mi glywed taenellwyr enwog yn addef mai ei ystyr yw *passage*, neu fynedfa trwy. Yn awr, os yw rhai yn gosod Bethabara mor agos i'r Iorddonen ag i fod Ioan yn cyrchu dwfr oddiyno i fedyddio, cawn ninnau ei osod, gan fod *passage* yn beth tebygol mewn afon fel hon, ar làn yr Iorddonen, yn bentref neu dref, neu o leiaf yn le ag y gallai rhywun fel Iesu "*aros*" ynddo, h.y., lletya neu drigo. Yr ydym am osod yr afon yn fâs neu rydiog gyferbyn â Bethabara, fel ag i fod yn gyfleus i ddynion ac anifeiliaid i groesi drwyodd o'r tu hwnt, am fod y lle wedi ei enwi yn *passage*. Os caniatêir hyn, ac y mae rheswm yn ei ganiatâu yr ydym yn cael Ioan yn bedyddio yn yr Iorddonen, ac yn Bethabara o ran lle ar ei glàn; megys ag y gellid cyhoeddi fod Parchedig Gyhoeddwr *Seren Gomer* yn bedyddio yn yr afon Towy, pan y buasai yn Nghaerfyrddin o ran lle ar ei glàn. Mae yr enw Bethabara yn gwneyd yr afon yn y man hyny heb fod o ddyfnder gormodol i drochi, ac yn gosod tai er newid dillad, a'u sychu, &c., neu o leiaf i ateb llawer o wrthddadleuon y taenellwyr. Ond, meddai rhywun, gan fod Bethabara y *tu hwnt* i'r Iorddonen (gwel Ioan i, 28), nis gallai fod ar ei glàn. Gellir ateb fod y *tu hwnt* hwn yr un â'r *tu hwnt* (other side) sydd yn Ioan vi, 22, yr hyn sy'n meddwl yr ochr arall. Yr oeddym yn meddwl yn y llinellau blaenorol mai dim ond rheswm oedd genym i brofi fod Bethabara ar làn yr Iorddonen; ond erbyn edrych y mae genym ysgrythyr, ïe, i brofi mai bedyddio yn yr Iorddonen oedd Ioan pan yr oedd yn bedyddio yn Bathabara. Darllener y bennod gyntaf o efengyl Ioan. Yr ydym yn darllen fod y bedyddiwr Ioan yn cael ei gwestiyno gan y Lefiaid a'r offeiriaid, ac y mae adn. 28 yn hysbysu i hyn gymmeryd lle "yn Bethabara, y tu hwnt i'r Iorddonen, lle yr oedd Ioan yn bedyddio" yr amser hyny. Ceir yr adnod nesaf yn dweyd—"Tranoeth Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod ato; ac efe a ddywedodd, Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd," yr hyn, ynghyd â'r adnodau dilynol, a ddangosant i'r Iesu gael ei fedyddio y pryd hyny, ac yn y lle hwnw (Bethabara.) Etto, yn Math. iii, 13, dywedir—"Yna y daeth yr Iesu o Galilea *i'r Iorddonen at Ioan*, i'w fedyddio gan-

ddo;" ac yn Marc i, 9, dywedir—"Ac efe a fedyddiwyd gan Ioan *yn yr Iorddonen*." Fe wel pawb bellach fod synwyr cyffredin ac ysgrythyr yn cadarnhau mai *yn* yr Iorddonen, ond yn Bethabara fel lle, yr oeddid yn bedyddio, a bod yr afon yn gyfleus, tai yn agos a digon o Ysbryd Duw gan Ioan i'w nerthu i gyflawni ei waith, yn ngwyneb cyfnewidiadau hin a lliosogrwydd ei ddeiliaid bedydd. Mae y cyfan, ynte, yn troi yn ffafriol i drochi, a hyny yn yr Iorddonen. Yn nesaf, cawn fod Ioan hefyd yn "bedyddio yn Ainon, yn agos i Salim," ac yn gyssylltiedig â hyny, dywedir —"Canys dyfroedd lawer oedd yno." I ba beth y crybwyllir yma am "ddyfroedd," os nad yw yn dangos fod y lle yn gyfleus i drochi yno fel yn yr Iorddonen? Ei fod yn gosod allan le i daenellu, sydd yn ymddangos yn annhebyg. Ond, ebe rhywun, mae y gair *yno* yn arwyddo mai yn Salim, ac nid yn Ainon, yr oedd y "dyfroedd lawer;" ac etto, nad yw y "dyfroedd lawer" yn cael eu crybwyll i ddangos fod yno lefydd cyfleus i drochi, ond am eu bod yn gyfleus i'r torfeydd i wersyllu yno. Pa faint yw'r pellder rhwng Ainon a Salim, tybied? Nis gwn i; ond gwn hyn, ei fod yn beth annhebyg iawn y buasai Ioan yn bedyddio yn Ainon, os mai yn Salem yr oedd yn fwyaf cyfleus i wersyllu; canys yr oedd yn achosi trafaelu o un man i'r llall a ellid hebgor yn fwy manteisiol. Wrth *wersyllu* y mae yn arferol i gael pebyll, ac amryw bethau ereill i'r dyben. Addefir hyn, mi debygaf. Ond, a addefir i "holl Judea, Jerusalem, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen," i fyned â phebyll, &c., ganddynt, pan aethant at Ioan i'r Iorddonen, fel ag i fod yn gyfleus i newid dillad, &c., pan oedd efe yn eu bedyddio? Beth? *Na wneir*? Wel, ni allaf finnau addef iddynt fyned â dim ganddynt hefyd i Salim er gwersyllu yno. Yn awr, gan ein bod yn methu cytuno ynghylch y peth yna, awn i chwilio am rywbeth arall; a dyma ein taenellwr yn cael allan nad trochi yr oedd Ioan, o herwydd fod yr Iesu a'r holl fobl yn cael eu bedyddio yr un pryd, a'i brawf a welir yn Luc iii, 21, 22—"A bu, *pan* oeddid yn bedyddio yr holl fobl, a'r Iesu yn ei fedyddio hefyd, ac yn gweddio, agoryd y nef, a disgyn o'r Ysbryd Glân mewn rhith corfforol, megys colomed, arno ef; a dyfod llef o'r nef yn dywedyd, Ti yw fy anwyl Fab; ynot ti y'm boddlonwyd." Yn awr, os mai yr un pryd oedd y bedyddio, yr un pryd hefyd y gweddiodd Crist, yr agorodd y nef, y disgynodd o'r Ysbryd, ac y daeth y llef o'r nef. Ond y mae yr esboniad yna o'r geiriau yn milwrio yn erbyn ffeithiau; canys dywedir yn

Math. iii, 16—"A'r Iesu, *wedi* ei fedyddio, a aeth yn y fan i fyny o'r dwfr; ac wele y nefoedd a agorwyd iddo, &c." (Gwel hefyd Marc i, 9, 10.) Mae yn amlwg wrth hyn, nad yw prawf ein taenellwr yn golygu mwy nag i'r pethau hynod a nodir i ddygwydd yn yr amser y bu Ioan yn bedyddio y bobl, a'r Iesu hefyd; oblegid, pe amgen, y mae yn rhaid myned i anhawsdra mawr—y mae yn rhaid penderfynu i'r "*holl bobl*," sef yr holl rhai a ddaethant at Ioan (yn ol yr hanes) i gael eu taenellu *oll* yr un pryd, ie, o fewn y fynyd y darfu i'r Ysbryd ddisgyn ar yr Iesu—mai ar un waith neu gynnyg y taenellodd efe ei *holl* fedyddiedigion yn yr Iorddonen, ac iddo gyflawni ei waith yno ar ddim ond un *stroke*. Yr oedd yn rhaid fod ganddo beiriant da i ddaenellu, cyn y gallai gyflawni y fath orchest ryfeddol. Ond y mae yn amlwg, os oedd gormod o rifedi i'w trochi bob yn un, mewn amryw ddyddiau, yr oedd gormod hefyd i'w taenellu oll ar unwaith. Wedi methu o'r prawf blaenorol dros daenellu, yr ydym yn cael ein harwain at yr anmhosiblrwydd i geidwad y carchar a'i deulu gael eu trochi ar ganol nos, pan oedd yr apostolion yn eu "briwiau," ac heb un cryhwylliad iddynt fyned allan o'r carchar. Yr hyn a ellir ddweyd yw hyn:—Cawsant eu "bwrw i'r carchar nesaf i mewn." (Act. xvi, 24), "ac [efe] a'u dug hwynt allan" (adn. 30); ac yn nesaf yr ydym yn cael yr apostolion yn traethu "iddo air yr Arglwydd, ac i hawb oedd *yn ei* DY *ef*:. ac efe a'u cymmerth hwy yr awr hono o'r nos, ac a olchodd eu briwiau: ac efe a fedyddiwyd, a'r eiddo oll, yn y fan [sef yn fuan]. Ac wedi iddo eu dwyn hwynt *i'w dy*, efe a osododd fwyd ger eu bron hwy," &c. (adn. 32—31). Mae yn amlwg na fedyddiwyd yn y carchar nesaf i mewn, nac yn y tŷ; ac y mae yn amlwg hefyd i'r apostolion draethu gair yr Arglwydd "yn ei dŷ ef," cyn bedyddio, ac iddynt gael eu dwyn drachefn i'r tŷ ar ol hyny. Os mai taenellu oeddynt, yr oedd yn fwy cyfleus i wneyd hyny yn y tŷ; ond os trochi, yr oedd yn rhaid myned allan; ac allan yr aethant, ie, "yr awr hòno o'r nos." ond ni wyddom i ba le, ac i *drochi*, mae yn debygol. Yr oedd y Duw a agorodd y carchar yn abl cadw y "briwiau" rhag gwaethygu yn y dwfr; ac yr oedd yr Hwn a ddywedodd "Ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach," yn wastad yn gofalu am y rhai a ufyddhaent iddo. Gwna y sylw diw eddaf ateb pob gwrthddadleuon hefyd yn erbyn trochi Saul o Darsus.—Yr ydym wedi olrhain digon, debygwn i, ar y pwnc hwn, bellach; ond yr wyf o'r farn fod yn rhaid rhoddi rheswm cyn

gorphen dros y dywediad, "Bedyddio *a* dwfr." Pa fodd y mae hyny yn drochi? Yn gymmaint â bod gwahanol ddysgedigion yn profi fod mwy nag un ystyr i'r gair Groeg am fedydd, arweinir ni i farnu mai enw ar yr ordinhad, yn hytrach nâ dangosiad y dull o'i gweinyddu, yw *bedydd*; ac o ganlyniad, mai y rheswm dros y "bedyddio *a* dwfr" yw, am mai â dwfr yr ymwneir yn yr ordinhad, megys yr ymwneir â'r Ysbryd pan y byddis yn "bedyddio â'r Ysbryd Glân." Nid yw trochi ynddo ei hun yn fedydd; eithr y mae yn rhaid fod y gweinyddwr yn gymhws i'w swydd, y bedyddiedig yn ufydd ac yn edifeiriol, a'r cyfan yn cael ei gyflawni yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Efallai bod rhai yn barod i ddadleu fod yn rhaid mai taenellu yw y dull iawn, am y dywedir mai cael ei *dywallt* oedd yr Ysbryd; ond fe welir yn amlwg oddiwrth amrywiol fanau fod bedydd yr Ysbryd yn wahanol yn ei ddull (os addas y gair) i fedydd taenellu. Desgrifir ef yn Act. ii, 2—"Yn ddisymwth daeth sŵn o'r nef, megys gwynt nerthol yn rhuthro, ac a *lanwodd* yr holl dŷ lle yr oeddynt yn eistedd. Ac ymddangosodd iddynt dafodau gwahanedig o dân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt. A hwy oll a *lanwyd* â'r Ysbryd Glân, ac a ddechreuasant lefaru â thafodau ereill." Pa beth oedd y sŵn, tybied? Ai nid â'r un peth y llanwyd y dyscyblion, ag y llanwyd y tŷ? Nid â'r tafodau y llanwyd y dyscyblion, ond â'r hyn oedd yn bresennol yn y tŷ, sef yr Ysbryd Glân. Mae yn amlwg ddigon mai bedydd yr Ysbryd oedd hyn; ond pa beth sydd yn debyg ynddo i daenellu neu drochi? Nid yw dyn yn cael ei lanw gan y naill ddull nâ'r llall; ond mae bedydd yr Ysbryd yn llanw. Ond, meddai rhywun, y tafodau yn aros arnynt oedd y bedydd. Wel, ynte, edrych i'r bedyddio â'r Ysbryd a ddesgrifir yn Act. viii, 17; ix, 17; xix, 6, a chai weled nad oes sôn am y tafodau. Cawn adael dull gweinyddu yr ordinhad, bellach, gan adael y cyhoedd i benderfynu ynddynt eu hunain ar ein hymchwiliad; a bydd i ni frysio i ddangos, yn

IV. A OEDD GWAHANIAETH RHWNG BEDYDD IOAN AG UN CRIST.

Dywed rhai fod bedydd Ioan yn efengylaidd, ac nad oeddid yn bedyddio neb ar ei ol; ac ereill a ddywedant fod yr apostolion yn bedyddio rhai ar ei ol. I ddangos nad oedd bedydd Ioan yn gwneyd y tro yn lle bedydd yr apostolion (neu fedydd Crist) arweinir ni at y deuddeng a fedyddiodd Paul yn Ephesus (gwel Act. xix, 1—7), y rhai a ddywedir eu bod wedi eu bedyddio "i fedydd Ioan." Ond cawn brofi yn fuan na fedyddiwyd y rhai hyn gan Ioan. Yr ydym yn darllen i Paul ofyn i'r deuddeg, "A dderbyniasoch chwi yr Ysbryd Glân, er pan gredasoch?" a'r ateb gafodd oedd," Ni chawsom ni gymmaint â chlywed a oes Ysbryd Glân." Meddai Paul drachefn, mewn syndod, debygaf, "I ba beth, gan hyny, y bedyddiwyd chwi?" Atebasant, "I fedydd Ioan." "Ioan," ebe Paul, "yn ddiau a fedyddiodd â bedydd edifeirwch, gan ddywedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yn Nghrist Iesu." Ai tybied fod y rhai hyn wedi eu bedyddio gan yr hwn oedd yn dweyd wrth ei fedydd,

ledigion am gredu yn mab Duw, ac yn dysgu iddynt y cawsent eu bedyddio â'r Ysbryd Glân? Hwy wedi eu bedyddio gan Ioan, ac heb wybod pa un a oedd Ysbryd Glân neu beidio!! Mae yn groes i bob rheswm i feddwl hyny. Wel, a oeddynt yn dweyd anwiredd, ynte? Os oeddynt, nid yw yn debyg y buasent yn derbyn yr Ysbryd Glân mor fuan wedi ei hail-fedyddio. Beth sydd i feddwl, ynte? Meddwl iddynt gael eu bedyddio gan un o efelychwyr Ioan, yr hwn oedd heb awdurdod, ac "heb ddeall," fel Apolos (Act. xviii, 25), "ond bedydd Ioan yn unig." Y deuddeg dyscybl, "pan glywsant hwy hyn, hwy a fedyddiwyd yn enw yr Arglwydd Iesu; ac wedi i Paul osod ei ddwylaw arnynt, yr Ysbryd a ddaeth arnynt; a hwy a draethasant â thafodau ac a brophwydasant." Ni fedyddiwyd, ynte, ar ol Ioan. Yn Ioan i. 35—37, gwelir fod dau o ddyscyblion Ioan yn troi yn ddyscyblion i Grist, wedi i Ioan ddangos iddynt mai Oen Duw oedd efe. Yn awr, cyn eu bod yn ddyscyblion i Ioan, yr oedd yn rhaid eu bod wedi eu bedyddio ganddo; ac yr ydym yn cael eu bod wedi eu hordeinio yn apostolion, ond heb un son eu bod yn cael eu bedyddio yn flaenorol, canys pwy a'u bedyddiai ond Ioan. Y mae yn ddigon amlwg bellach fod bedydd Ioan yn gymhwys yr un fath â bedydd Crist, a bedydd Crist yr un fath â bedydd Ioan —y ddau yn fedydd edifeirwch er maddeuant pechodau.

V. Pa beth yw geni o Ddwfr ac o'r Ysbryd?

Y mae yn eglur fod dyn yn cael ei eni o ddwfr, pan y byddo yn cael ei fedyddio er maddeuant pechodau; ac y mae dyn yn cael ei eni o'r Ysbryd Glân, pan y byddo yn derbyn yr Ysbryd trwy arddodiad dwylaw. Nid yw bedydd yr Ysbryd Glân yn flaenorol i fedydd dwfr; ond ar ei ol, canys y pryd hyny y mae addewid o ddawn yr Ysbryd. Gwel Act. ii. 38, 39. Ni chafodd yr eunuch fedydd yr Ysbryd gan Phillip; ac wedi iddo fedyddio y Samariaid, ni dderbyniasant yr Ysbryd Glân cyn i'r apostolion ddyfod i arddodi dwylaw arnynt (Act. viii, 14—17). Y mae yn sicr fod yn rhaid cael bedydd dwfr a bedydd yr Ysbryd, cyn y gellir myned i mewn i deyrnas Dduw.

Yn awr, ddarllenydd anwyl, yr wyt yn gweled ein bod wedi gwneyd ymchwiliad teg i'r Testament Newydd yngylch bedydd, a bod y cyfan yn ymddangos dros mai dyben bedydd yw er maddeuant pechodau—mai rhai yn credu tystiolaeth gweision Duw, ac yn edifarhau am eu pechodau, yw unig ddeiliaid yr ordinhad—mai trwy drochi mewn dwfr gan weinidog awdurdodedig yw y dull iawn o'i weinyddu—mai yr un peth oedd bedydd Ioan ac un Crist, ac mai geni o ddwfr ac o'r Ysbryd ydyw bedydd dwfr a bedydd yr Ysbryd Glân, ac fod yn rhaid cael y ddau cyn y gellir bod yn gadwedig.

J. Davis.

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.